Gof. 70. **Pa sawl rhan sydd o weddi 'r Arglwydd ?**

Atteb. *Y mae yngweddi 'r Arglwydd dair o rannau cyffredinol, sef yw hynny, y rhag-ymadrodd, yr eirchion, a thalu diolch.*

Gof. 71. **Ym mha eiriau y mae y rhag-ymadrodd i weddi 'r Arglwydd yn gynnwysedig ?**

Atteb. *Y mae y rhag-ymadrodd i weddi 'r Arglwydd yn y geiriau hyn, Ein Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd.*

*Eglurh.* Yma y dygir ar gôf ini Ddaioni Duw a'i Fawredd.

Ei Ddaioni ef a gynwysir yn y gair *Tâd.*

Ei Fawredd ef a osodir allan wrth sôn am lê pennaf ei breswylfod ef, sef *y nefoedd*, Lle 'r amlygir ei agoniant ef yn rhagorol.

Y cyntaf sy 'n dangos mor barodol yw Duw i wrando ac i atteb ein gweddiau ni, gan ei fod ef yn Dâd grasusol ini drwy Grist Jesu.

Yr ail a fynega mor alluog yw efe i'n helpu ac i ganiatau ein gweddiau.

Jawn Ystyriaeth o'r ddau a ddichon weithio ynom ni hyder a parchedic ofn, y rhai sydd weddol, a rheidiol eu bod ynom ni, wrth ini nesâu at Dduw mewn gweddi. Dylaem fod yn sicer o serch tadol Duw tuag attom ni, fel y byddo ynom ni galon i fyned atto ef, ac i roi ein hymddiried arno ef am bob peth da a fyddo reidiol. Felly hefyd y dylaem ni ymostwng ger ei fron ef mewn môdd isel a sanctaidd, gan ei fod ef yn y nefoedd, a ninnau ar y ddaiar.

Gof.

Gof. 72. **Pa un yw 'r gofyniad neu 'r Arch cyntaf?**

Atteb. *Sancteiddier dy enw.*

Gof. 73. **Pa beth a ofynnir yma?**

Atteb. *Bod i Dduw ym mhob peth, ac ar bob amser, gael ei anrhydeddu a'i ogoneddu drwyddom ni a'r holl greaduriaid.*

*Eglurh.* Yngweddi 'r Arglwydd y mae chwech o ofynnion neu eirchion, o'r rhai Y mae 'r tri cyntaf yn perthyn i ogoniant Duw, a'r tri olaf i'n bûdd ein hunain.

Er mwyn deall ergyd yr arch cyntaf yn well, ystyriwn pan fôm yn gweddio ar gael o *enw Duw ei sancteiddio*, ein bod ni yn dymuno arno ef,

1. *Ein cynnorthwyo ni iw ogoneddu ef*, yn ein meddyliau, gan ei gydnabod ef yn Greawdwr, yn Gynhaliwr, ac yn lywodraethwr pob peth; yn ein calonnau, gan ei garu ef, a rhoi ein ymddiried ynddo ef vwchlaw pob peth; yn ein bucheddau, gan ogoneddu Duw yn ein holl weithredoedd, a threfnu ein ffyrdd, fel y byddo iddo ef gael anrhydedd oddiwrthym ni, *Matth.* 5. 16.

2. *Bod i eraill hefyd ogoneddu enw Duw*; sef bod i'r bŷd oll ryfeddu a chlodfori ei Hollalluogrwydd ef, a'i anfeidrol ddoethineb, a'i gariad, a'i ragluniaeth ef ar bob peth, *Esa.* 67. 3. a rhyngu ei fôdd ef.

3. Bod i *Dduw amlygu ei anrhydedd a'i ogoniant*, wrth drefnu pob beth i weithio at hynny.

Ystyr yr arch cyntaf ar fyrr yw hyn: sef, yn gymaint ac na wyddom ni o honom ein hunain pa fodd i anrhyddeddu Duw yn iawn, ydd ym yn gweddio arno ef am ein cynnorthwyo

northwyo ni ac eraill drwy ei râs iw ogoneddu ef bob amser â meddyliau, ac a chalonnau, ac a bucheddau: Ac ar fod iddo ef drwy ei oruchel ragluniaeth drefnu pob peth iw ogoniant bendigedic ei hun.

Gof. 74. **Pa vn yw'r ail arch?**

Atteb. *Deled dy deyrnas.*

Gof. 75. **Beth a ddeisyfir yma?**

Atteb. *Bod i Dduw wanhychu a gorchfygu gallu Satan, a derchafu teyrnas ei Rad drwy amlhau ei ddeiliaid beunydd, a phryssuro teyrnas Gogoniant drwy ddyfodiad Christ ir farn.*

*Eglurh.* Yn yr arch cyntaf dyscodd ein Jachawdwr ini weddio am dderchafu gogoniant Duw yn y byd; i ddangos ini y dylaeu ein gofal a'n egni pennaf ni fod, ar i Dduw gael ei ogoneddu a'i anrhydeddu gennym ni, a chan ei greaduraid oll.

Yn y man nesaf y mae efe yn ein cyfarwyddo ni i weddîo ar iw *deyrnas ef ddyfod*: yr hyn yw'r modd goreu i dderchafu ei ogoniant ef yn y bŷd.

Er mwyn synied helaethrwydd yr arch hwn yn well, myfi a ddangosaf,

2. Beth a ddeellir wrth *deyrnas Dduw.*

Soniff yr yscrythyr am ddau fath ar deyrnas Dduw:

Sef yn Gyffredinol, ac un neilltuol.

Ei deyrnas gyffredinol ef yw ei Allu Goruchel ef drwy 'r hwn y mae efe yn rheoli ei holl greaduriaid. Am y deyrnas hon y llefara 'r Psalmydd, *Psal.* 103. 19.

Ei deyrnas neilltuol ef sydd mewn dau fodd, sef ei deyrnas o râs, â'i deyrnas o ogoniant. Yr vn a'r vnrhyw deyrnas yw, er ei dosparthu yn ddwy ran, oblegyd

rhyw

rhyw ragoriaeth mewn rhai amgylchiadau; megis,

1. *Mewn amser*, teynas grâs sydd yn y bywyd hwn, a theyrnas gogoniant yn y bywyd i ddyfod.

2. *Mewn llê*, teyrnas grâs sydd ar y ddaiar, teyrnas gogoniant yn y nefoedd. Teyrnas grâs yw 'r cyflwr ysprydol ym mha vn y mae pobl Dduw yn ewyllysgar yn ymostwng i Ewyllys Duw, ac yn cydymffurfio â hi. Teyrnas gogoniant yw cyflwr bendigedic pobl Dduw yn y nêf. Y gair *deled* yn yr arch hwn sydd yn yspysu deisyfiad ar fod i deyrnas grâs gynnyddu a myned rhagddi i berffeithrwydd, a brysio o deyrnas gogoniant.

II. *Y mae gan ddiafol deyrnas yn y bŷd hwn.* Gelwir ef yn *dywysog*, yn *Dduw 'r bŷd hwn*, yn *lywodraethwr tywyllwch.* Nid yw efe reolwr wrth vniondeb, ond yn vnic drwy ddioddefgarwch Duw, a'i daerni ei hun.

III. *Y mae teyrnas y cythrael yngwrthwyneb i deyrnas Dduw*: ac fel y derchafer y naill, iselir y llall.

Yntev ystyr yr arch hwn, *deled dy deyrnas*, yw hyn, sef deisyfiad ar i Dduw dorri gallu Satan, a gwared ei etholedigion ei hun allan o'i feddiant ef, ac o ddwylo eu holl elynion: ac ar iddo dderchafu teyrnas grâs drwy amlhau ei deiliaid beunydd, a'u cryfhau mewn sancteiddrwydd, a brysio o deyrnas gogoniant drwy ddyfodiad Christ ir Farn, fel y bo i ddedwyddwch pobl Dduw fod yn gyflawn byth.

Gof. 76. **Beth yw 'r trydydd arch?**

Atteb. *Gwneler dy ewyllys, megis yn y nef, felly ar y ddaiar hefyd.*

Gof. 77. **Beth a ddeisyfir yma?**

Atteb.

lawer enaid tywyll yn y dydd hwn: gan ei wneuthur yn ddydd priodas i lawer, ac o'i diweddîad i Grist. Miloedd a gawsant yr ail-enedigaeth arno. A chan ddarfod i Dduw fel hyn anrhydeddu ei ddydd ei hun, a feiddiwn ni ei ddirmygu ef? Gan i Dduw ei fendithio, a fydd ini ei halogi ef?

Yn ail, y mae Duw yn bendithio gwaith pobl yn iawn gadw ei ddydd ef *iw bûdd amserol* gyd ag iw bûdd Ysprydol, 1 *Tim.* 4. 8. *Duwioldeb sydd fuddiol i bôb peth*, a chenddi addewid o'r bywyd y sydd yr awr hon, ac o'r hwn a sydd. Y mae elw Mawr mewn gwir dduwioldeb, gan fod y nêf a'r ddaiar wedi eu gwneuthur arni. Ac ym mha beth yr amlygir gwir dduwioldeb yn fwy, nag wrth gadw dydd yr Arglwydd yn gydwybodus? A pha ddyfalaf y bom ni yn iawn sancteiddio hwnnw, mwyaf a fydd y fendith a allwn ni ei disgwil yn ein galwedigaethau ar ddyddiau 'r wythnos. Os dechreuwn ni yr wythnos gydâ Duw ar y dydd cyntaf o honi, Efe a fydd sicer o'n dilyn ni â'i fendithion y rhan arall o honi. Ynteu 'r ffordd ddiogelaf i ynnill cynhaliaeth i ni, ac i 'n plant yw cadw 'r Sabboth yn sanctaidd.

At y rhesymmau hyn y chwanegaf y peth sydd gynwysedig yn y gair cyntaf o'r gorchymmyn, sef, *Cofia*. Oddiwrth yr hwn air y mae ini ystyried yr hyn a galyn.

1. *Ein tueddiad i anghofio cadw'r Sabboth yn sanctaidd.* Anhydyn ydym iddo. Anhawdd a pheth gwrthwynebus yw gan natur lygredic dreulio diwrnod neu awr gyda Duw yn ddifrifol.

2. Y mae bywyd crefydd a Christianogaeth yn cael ei gynal yn ddirfawr wrth sancteiddio 'r dydd Sabboth. Am hynny y dywedodd athro duwiol, *y diddymmir crefydd*, os

[ Rhaid troi 6 Dalen i gael
2 Diwedd y gorchymynion

Atteb. *Bod ini tra fo'm byw ar y ddaiar, ymegnio i roddi 'r fath vfydd-dod i ewyllys Duw, ac a rydd y Sainct a'r Angylion yn y nef.*

*Eglurh.* Er mwyn agoryd yr Arch hwn yn well, myfi a ddangofaf ar fyrr eiriau,

1. *Beth a ddeellir yma wrth ewyllys Duw.*
2. Beth wrth ei gwneuthur.
3. Beth wrth y geiriau, *megis yn y nef.*

Am y cyntaf, fef yr hyn a ddeellir wrth *ewyllys Duw.*

Er nad yw ei ewyllys ef ond vn, etto y mae 'n rhaid ini wrth yftyriaeth dau ddyblyg o honi.

Canys y mae ini feddwl am ei ewyllys ef yn rhoddi gorchymynnion, yr hon a fyn ef ini ei hadnabod, ac vfyddhau iddi; ac am ei ewyllys ef a amlygir yn ei ragluniaeth, y fydd yn dwyn pethau i ben yn y byd. Y mae 'r arch hwn yn dymuno cyflawni cwbl ewyllys Duw.

Am yr ail, *gwneuthur ewyllis Duw* fy 'n arwyddoccau dau beth, fef, rhoddi vfudddod bywiol i ewyllys Duw, a yfpyfir yn ei orchymmynion ef;

Ac ymddarostwng yn ddioddefgar iw ewyllys a amlygir yn ei ragluniaeth ef, er ei bod yn groes i'n cnawd llygredig ni.

Am y trydydd, wrth y geiriau hyn *megis y mae yn y nef*, y mae ini yftyried yr vfudddod firiol, ddyfal, ferchog, gynnes, galonnog, ddiragrith, a rydd yr Angylion a'r Sainct gogoneddus i ewyllys Duw, a dylaem weddîo am gael grâs i wneuthur ei ewyllys ef â chymaint o burdeb ac a fo cyttunol â'n cyflwr yn y bywyd hwn, a thebygol mewn mefur o gywirdeb i'r hwn y maent hwythau yn byw ynddo.

Yntcu yſtyr yr arch hwn yw hyn, ſef gan ein bod ni a phawb a'r a drigant ar y ddaiar heb ewyllyſio wrth natur, ac heb allu cadw gorchymmynion Duw, ydd ym i daer weddio droſom ein hunain a thros eraill, ar i Dduw dwy ei yſpryd roddi ini ewyllys a gallu iw adnabod ef, ac i vfuddhau iw orchymynion ef, ac i groeſawu ei ragluniaeth ef, a hynny gydâ 'r ſath burdeb, a diwydrwydd, a bodlonrwydd, ac a arfer yr Angylion yn y nêf.

Och faint nifer, a greſyned cyflwr, y rhai a ddywedant *gwneler dy ewyllys*, ac etto a fynnant eu ewyllys eu hunain yn vnic, ac a fyddant annioddefgar pan ei gommedder iddynt!

Gof. 78. **Pa un yw 'r pedwerydd arch?**

Atteb. *Dyro ini heddyw ein bara beunyddiol.*

Gof. 79. **Beth a ddeiſyfir yma?**

Atteb. *Ar i Dduw roddi ini bob peth angenrheidiol yn y bywyd hwn, a'i fendith gyda hwynt.*

*Eglurh.* Er agoryd yr arch hwn yn amlyccach, myſi a ddangoſaf i chwi,

1. Beth ſydd ini iw ddeall ima wrth *fara*.

2. Pam yr henwir bara yma yn hytrach na dim arall, a'r ſydd reidiol i'r corph.

3. Pam y gweddiwn am fara dros ddiwrnod, yn hytrach na thros fis neu flwyddyn.

Am y cyntaf, wrth *fara* yma y mae ini ddeall ein lluniaeth a phob peth daionus a'r ſydd reidiol i gynnal ein bywyd preſennol a'n cyflwr cyſſurus yn y bŷd, megis bwyd, diod, dillad, phyſygwriaeth.

Am yr ail, ſef pam yr henwir bara yma

yn hytrach na phethau eraill, ystyriwn,

Mai bara yw 'r peth rheitiaf yn y byd tuag at ein bywyd a'n iechyd ni. Ac wrth hyn dylaem ddyscu ffrwyno ein serch i bethau daiarol, ac na ddeisyfom o honynt fwy nag y mae 'n anghenrhaid ni yn ei ofyn. Ni ddyscir ini ofyn soft-ieir, ond bara, na danteithfwyd ond lluniaeth iachus.

Ac wrth hyn hefyd y mynnai Duw ini ddeall y dylaem ni fod yn fodlon er na bo gennym ormodedd. Y mae tlodi lawer môdd yn well na golud. Llawnder a dywylla 'r deall, a enynna chwant, a bortha falchder, a anghofia Dduw; ond cyflwr gwaelach a fydd iddynt yn achlysur cynnorthwyol i ymddiddyfnu oddiwrth serch ir byd, ac i ymgodi tuag at Dduw. Am hynny medd yr Apostol, 1 *Tim.* 6. 8. *O bydd gennym ymborth a dillad ymfodlonwn ar hynny.*

**Am y trydydd, sef pam y dyscir i ni weddîo am fara beunyddiol, yn hytrach nag am fara blynyddawl, Ergyd hyn yw peri ini *Ymddiried i Dadol ragluniaeth Duw* o ddydd i ddydd.**

**Ac i osod angenrhaid arnom ni i *weddîo beunydd.* Megys ac yr ydym yn pechu beunydd yn erbyn Duw,** ac mewn eisiau c luniaeth bob dydd i faethu 'n cyrph, felly y dylaem weddîo beunydd am gael maddeuant o'n pechodau, a'n cynhaliaeth beunyddiol.

Ynteu ystyr yr arch hwn ar fyrr yw hyn; sef,

Yn gymmaint a'n bod ni drwy godwm Adda wedi colli ein hawl ir trugareddau perthynol i'r bywyd hwn, ac yn haeddu bod hebddynt, ydd ym ni yma yn gweddio drosom ein hunain a thros eraill, gael o honom

 ni

ni a nhwythau oddydd i ddydd y fath ran o bethau daiarol gan Dduw, gydà ei fendith ef arnynt, megis ac y gwelo efe fod yn llesol ini.

Gof. 80. **Pa un yw'r pummed arch?**

Atteb. *Bod i Dduw er mwyn Christ ein gwaredu ni oddiwrth cuogrwydd ein holl bechodau, a'r gosp ddyledus iddynt, a rhoddi grâs ini i faddeu i eraill yr hyn a wnaethant i'n herbyn, fel wrth wneuthur hynny, y derbyniom sicrwydd o faddeuant ein pechodau ein hunain, y rhai a wnaethom yn erbyn Duw.*

*Eglurh.* Yn yr arch hwn y mae dau beth iw ystyried,

1. Y maddeuant a ofynnir yn y geiriau hyn, *maddeu ini ein dyledion.*

2. Yr ammod a roddir wrtho yn y geiriau hyn, *fel y maddeuwn ninnau i'n dyled-wŷr.*

Am y cyntaf, wrth faddeuant o'n pechodau y deellir yma gwbl ollyngdod a rhyddhâd oddiwrth cuogrwydd ein pechodau, a'r gosp ddyledus iddynt, a hynny heb iawn iw ofyn oddiwrthym ni, ond er mwyn haeddedigaethau Christ.

Yn ail, er mwyn agoryd yr ammod a chwanegir at yr arch yn y geiriau hyn, *fel y maddeuwn i'n dyled-wŷr*, myfi a ddangosaf i chwi,

1. Pwy sydd ini iw deall wrth *ddyledwyr.*

2. Pa beth a ddeallwn wrth y gair *fel.*

3. Pam y cyssylltir y geiriau hyn, fel y maddeuwn i'n dyledwyr wrth yr arch hwn.

Yn gyntaf, wrth *ddyledwyr* y mae ini ddeall y rhai a wnaethant gam â ni yn ein Cyrph neu 'n golud, neu 'n enw da, ac enwir

hwy

hwy yma yn y rhif liosog, i ddangos y rhaid i'n maddeuant gyrhaeddyd hyd at lawer, ie hyd at bawb a wnelont i'n herbyn, pwy bynnag a wnelo gam â ni, bydded gyfaill neu elyn, tlawd neu gyfoethog, rhaid ini faddeu iddynt.

Yn ail, nid yw 'r gair *fel* yn arwyddoccau cwbl gogystadledd, megis pe gallem ni faddeu cymmaint ac yn gystal â Duw, ond bod ini mewn peth mesur geisio tebygu i Dduw yn maddeu i'n cymmydog y camwedd a wnaeth efe ini; a hynny o'n calonnau heb attal ynom gasineb ddirgel, ac mor llwyr a phe buasai heb ein digio ni erioed.

Yn drydedd, yr achosion pam y rhoddir y geiriau hyn, *fel y maddeuwn i'n dyledwyr*, wrth yr arch, yw y rhai hyn a galyn, sef yw hynny, *I fod yn annogaeth ini i faddeu i'r rhai a wnaethant gam â ni.* Canys yr ydym yn gweddio Duw i faddeu ini, fel yr ydym ninnau yn maddeu i eraill. Am hynny os nyni ni faddeuwn i eraill, yr ydym yn dymuno ar Dduw na faddeuo efe i ninnau, ond ein bwrw yn golledig. Ynteu ofnwn gau ein colonnau yn erbyn ein brodyr, rhag ini rwystro trugaredd Duw i ddyfod attom ein hunain. *Canys barn ddi-drugaredd fydd i'r hwn ni wnaeth drugaredd, Jag.* 2. 13.

Hefyd os nyni ydym yn maddeu i'n cymydog, y mae hynny yn *arwydd ac yn ffrwyth o gariad Duw tuag attom ni yn maddeu ini ein pechodau.*

Cariad a thrugaredd yn nŷn sydd lewyrch o'r goleuni cynnes sydd yn tywynnu ar ei enaid ef oddiwrth Dduw, *Matth.* 6. 14. Am hynny bydded ir hwn a fynno sicrwydd o faddeuant iddo ei hun gan Dduw, fod yn barodol i faddeu i eraill.

Swm yr arch hwn yn fyr yw hyn: sef ein



bod

bod ni yn ein cydnabod ein hunain yn bechadurus, ac yn euog o lawer o bechodau; drwy y rhai yr ydym ni yn noeth i ddigofaint a melldith Dduw yma ac yn ol hyn; a chan ein bod heb allel ein gwaredu ein hunain allan o'r cyflwr truenus hwn, yr ydym yn gweddîo drosom ein hunain ac eraill, ar fod i Dduw er mwyn Christ râd-faddeu ini ein holl bechodau, a thrwy ei râs ein nerthu ni i faddeu o'n calonnau ir rhai a wnaethant niwed i ni; fel y byddo ini wrth hynny gael ysbysrwydd gysurus i'n eneidiau ein hunain fod Duw yn maddeu ein pechodau ni.

Gof. 82. **Pa un ydyw 'r chweched arch?**

Atteb. *Nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg.*

Gof. 83. **Pa beth a ddeisyfir yma?**

Atteb. *Deisyfwn yma fod ir Arglwydd ein cadw ni oddiwrth brofedigaeth i bechod, a'n cynnorthwyo ni pan i'n profer, a'n gwaredu ni yn ei amser prydlawn.*

*Eglurh.* Yn yr chweched arch y mae ini ystyried chwe pheth.

1. *Ein bod ni mewn perigl o gael profedigaethau, ac o gael ein tynnu ir drwg ganddynt:* Sef i bechod, ac ir aflwydd a'r sydd yn ffrwyth o honaw. Y mae 'r bŷd yn llawn o brofedigaethau, y mae Satan a'i weision a'n chwantau ein hunain yn hudwyr taerion i ni; a phob cyflwr a digwyddiad yn llawn o faglau i'n heneidiau ni.

2. *Ynom ein hunain ein bod ni yn weiniaid i wrth-sefyll ac i orchfygu profedigaethau:* wrth fod ein natur yn lygredig, yr ydym ni yn dueddol i ymroddi iddynt.

3. *Fod gan Dduw allu goruwch pob profedigaeth, a gelyn hudol.* Nid all diafol na'i offerau gyflawni 'r hyn a fynnont: y maent gan Dduw mewn cadwen, ac nis gallant fyned vn fodfedd ym mhellach nag y caniado efe iddynt, 1 *Pet.* 2. 9. 1 *Cor.* 10. 13.

4. *Y dylaem ni weddîo am gael ein cadw oddiwrth brofedigaethau i bechod*: ond gydà ymddarostwng i ewyllys Duw, yr hwn sydd weithiau yn gadel profi ei blant anwylau er llesâd iddynt.

5. *Dylaem hefyd geisio gan Dduw ein cynnal ni danynt*, pan ddigwyddont ini:

6. *A'n gwaredu allan o honynt yn ei amser gweddus ef.*

Ynteu hyn yw cynwysiad yr arch hwn; sef, ar ryngu bôdd i Dduw, wedi iddo faddeu ein pechodau ni, roddi attal ar ddiafol a'i offerau, a darostwng ein cnawd, fel i'n cadwer ni a'r sainct oll rhag ein tynnu i bechod, ir hwn yr ydym wrth natur yn dueddol; a thrwy ei lân yspryd ein cynnal ni mewn purdeb, a'n gwaredu oddiwrth bob gweithred ddrwg, a'n cadw ni iw nefol deyrnas ef.

Hefyd y mae ini ddysgu yma y dylai Christianogion *ofni profedigaethau.*

A chymeryd gofal na *redont hwy iddynt*: os gweddiwn yn erbyn profedigaethau, ac er hynny rhedeg ir fath lêoedd a chyfeillach ac a fyddo debygol i'n tynnu ni i bechod, aiff ein gweddiau yn ddiffrwyth wrth fod ein bucheddau yn groes iddynt, a ninnau yn gwrthod cilio oddiar ffordd y drwg.

Gof. 84. **Ym mha eiriau yr adroddir diolch?**

Atteb. *Diolch a adroddir yn y geiriau hyn; Canys eiddot ti yw 'r deyrnas, a'r*

 *nerth,*

*nerth, a'r gogoniant yn oes oesoedd. Amen.*

*Eglurh.* Rhoddir y geiriau hyn ar lawr er rhoddi calon ynom ni, a chryfhau ein ffydd ni mewn gweddi, ac i'n cyfarwyddo i roddi moliant a diolch.

Y pethau a ddichon roddi calondid ynom ni i weddio Duw mewn hyder o gael ein gwrando ydynt bedwar.

1. Y cyntaf a gymerir oddiwrth ei Awdurdod goruchel ef, a gynwysir yn y gair *teyrnas*; *Canys eiddot ti yw 'r deyrnas*, sef yr ydwyt yn llywodraethu ar bob teyrnas, *yn Frenin y brenhinoedd, ac yn Arglwydd yr Arglwyddi*, 1 *Tim.* 6. 16. yn gallu gwneuthur a fynnech, a chyfrannu i ni y trugareddau a ofynom.

2. Yr ail a gymerir oddiwrth ei *allu anfeidrol ef*, drwy 'r hwn y dichon efe ganiatau ini ein holl eirchion, a gwneuthur erom vwchlaw 'r hyn a ofynnom ni neu a feddyliom, gan nad oes dim yn amhossibl iddo ef, *Matth.* 10. 27.

3. Y trydydd a gymerir oddiwrth *ogoniant Duw*. Gan ei fod ef yn Ogoneddus mewn trugaredd, a gwirionedd, a'i holl briodoliaethau, gallwn fod yn hyderus o'i ewyllysgarwch ef i wneuthur erom ni yr hyn a berthyn iw ogoniant ef a'n bûdd ninnau. Mor gymwys ynteu y mae Christ yn dyscu ini grybwyll wrth Dduw am *ei ogoniant*, pan fyddom yn cyflwyno ger ei fron ef eirchion perthynol iw anrhydedd ef?

4. Y pedwerydd a gymerir oddiwrth ei *Dragywyddoldeb anghyfnewidiol ef* yn y geiriau hyn, *yn oes oesoedd*. Hyn a ddichon gryfhau ein ffydd ni i ddisgwyl oddiwrth Dduw y cyfryw bethau ac a wnaeth efe er ei bobl

gynt,

gynt, o herwydd ei fod ef bob amser yr yn ac oedd. Medd Dafydd wrth ymgyssuro mewn gweddi, *Psal.* 22 4, 5. *Ein tadau a obeithiasant ynot, gobeithiasant, a gwaredaist hwynt. Arnat ti y llefasant, ac achubwyd hwynt: ynot yr ymddiriedasant, ac nis gwradwyddwyd hwynt.*

Yr ymadrodd hwn, *eiddot ti yw 'r deyrnas, a'r nerth, a'r gogoniant yn oes oesoedd,* sydd yn rhoddi ini batrwm i'n cyfarwyddo i roi moliant a diolch, gan gydnabod Mawrhydi, a gallu, a gogoniant, a thragwyddoldeb Duw.

Yma y dyscir ni i glodfori ac i foliannu Duw wrth weddio atto ef. Mawl sydd ddyledswydd mwy cymeradwy gan Dduw na phoeth-offrymmau, ac aberthau defodol, *Psal.* 50. 13. ac megis y mae ef yn hyfryd gan Dduw, felly hefyd y mae ef yn llesol i ninnau, wrth fod yn hôff gan yr Arglwydd haelionus roddi i bobl ddiolchgar.

Diwedd y weddi sydd yn y gair hwn Amen. Drwy 'r hyn y mynegir ein cydsynniad, a'n dymuniad am gael yr hyn a weddier amdano, a'n hyder y bydd i Dduw dderbyn ein deisyfiadau a'n mawl. Canys y mae Amen yn arwyddoccau *gwirionedd,* a chymaint ag felly bydded.

Medd dymuniad *felly y byddo,* ac medd hyder *felly y bydd.*

Terfyn.

*Gwyddorion y Grefydd Gristianogol wedi eu dwyso ynghyd mewn ychydig bennodau, iw dyscu ir cyfryw ac a fyddo anwybodus, neu anghofus, neu anllythrennog, ac yn anhawdd iddynt ddyscu catecysm mwy.*

1. Y mae vn Duw, y sydd Yspryd Hollalluog, Tragwyddol, Anfeidrol, Daionus, Cyfiawn, a Sanctaidd, yr hwn a greawdd y byd a phob peth sydd ynddo o dim; ac y sydd yn bennaf Rheolwr arno.

2. Yn yr vnic Dduw hwn y mae tri Pherson, y Tâd yw 'r creawdwr, y Mâb yw 'r Prynwr, a'r Yspryd Glân yw 'r Sancteiddwr.

3. Duw wedi ordeinio i ddŷn gael bôd amserol yn y bŷd hwn, ac vn dragywyddol yn y bŷd a ddaw mewn dedwyddwch neu drueni, a roddes iddo gyfraith, sef ei Air, wrth yr hwn y mae ei reoli ef yma, a'i farnu ef yn ôl hyn.

4. Wedi i Adda bechu, ac i holl ddynol ryw ynddo ef, ac ar ei ôl ef fyned yn llygredig, a syrthio dan ddigofaint a melldith Dduw, ac wrth hynny fod mewn perigl o ddamnedigaeth dragwyddol, Rhoddes Duw Jesu Grist ei Fâb iw wneuthur yn ddŷn, er mwyn marw dros eu pechodau hwy, a thrwy hynny iw prynu hwy oddiwrth farwolaeth dragwyddol, ac iw dwyn hwy i fywyd tragwyddol.

5. Cynnygir Jesu Grist, a phrynedigaeth ac iechydwriaeth drwyddo ef, i bawb a gredo ynddo ef, a chan edifarhau am eu pechodau, a ymroddant iw ddilyn ef, ac i vfyddhau iddo ef, mewn cyfiawnder, a sancteiddrwydd, holl ddyddiau eu bywyd, a chaiff y cyfryw fod yn gadwedig drwyddo ef.

6. Wedi marwolaeth adgyfodir cyrph pawb oll,

oll, y drwg a'r da; A bydd Brawd gyffredinol gyhoeddus, ym mha vn y trefniff Christ, Barnwr y byw a'r meirw, ir rhai ufudd a gredasant ynddo ef fyned i ddedwyddwch tragwyddol, ac ir rhai anufudd fyned ir tân tragwyddol.

---

Rhaid troi Saith Dalen i gael diwedd y weddi hon

*Gweddi iw harfer mewn Teuluoedd Borau a Hwyr, a osodwyd allan er mwyn y rhai hynny yn unig sydd yn rhaid iddynt wrth y fath Gymmorth.*

Y Bendigedig Arglwydd Dduw, yr hwn wyt yn fawr ac yn ogoneddus ynot dy hunan, ac yn ddaionus a grasol yn, a thrwy dy anwylyd, Jesu Ghrist. Duw wyti gogoneddus yn dy gyfiawnder i wneuthur dial ar y cyndyn a'r anedifeiriol; ond grasusol yn dy drugaredd i fyned heibio i gamweddau pechaduriaid truain edifeiriol. Arglwydd, yr ydym yn cydnabod a'n hanneilyngdod mawr i ddyfod i'th ŵydd di, i osod ein gweddiau a'n herfyniau gar dy fron. Ond er ein bôd ni yn annheilwng, etto mae Christ yn deilwng. Ni a ddymunwn arnat gan hynny er ei fŵyn ef edrych yn rasol arnom ni; i fyned heibio i'n hannheilyngdod, ac i gryfhâu ein gwendid. Ir diben hwn, fel yr ydym ni yn nesâu attati, felly rhynged bodd itti nesâu attom ninnau; gan roi nerth ynom i weddio fel mewn gostyngeiddrwydd a phurdeb, felly mewn zêl a gwrês ysprydol,

a thrwy

a thrwy ffydd yn Jesu Ghrist, gan edrych ynddo ac erddo ef i gael ein gwrando a'n derbyn.

Y bendigedig Arglwydd Dduw, ni allwn ond cyndabod, itti a'r y cyntaf ein crêu ni mewn cyflwr happus bendigedig, sef ar dy lûn a'th ddelw dy hun, gan ein cynnysgaeddu â gwîr wybodaeth, Sancteiddrwydd a chyfiawnder. Ond fe ddarfu ini fuan syrthio oddiwrth ein diniweidrwydd a'n happusrwydd yn lwynau *Adda*, ein Tâd cyntaf; ac a'n suddasom ein hunain gyd ag ef i lyngclyn ofnadwy o bechod a thrueni. Canys, ô Arglwydd, heblaw euogrwydd pechod *Adda*, ni a gawsom oddiwrtho ef lwyth o lygredigaeth a wenwynodd ein holl natur ni; a ddifwynodd ac a lygrodd holl nerthoedd ein heneidiau, gyd â holl rannau ac aelodau ein cyrph. Fel y gallwn yn gyfiawnoch o ran ein haflendid yspydol, weiddi allan, *Aflan*, *Aflan*, na'r dŷn gwahanglwyfus tan y ddeddf o ran ei aflendid corphorol. Ac ô Arglwydd, at y llygredigaeth naturiol hwn ni a chwanegasom amryw bechodau gwneuthurol, o'r eiddom ein hunain: y rhai, fel y maent o ran eu dull yn erchyll a ffiaidd, felly yn eu hamldra a'u rhifedi maent tu hwnt i wallt ein pennau, ac i'r tywod ar lan y môr, ni ellir mo'i rifo: Y rhai a wnaethom trwy holl ddyddiau ein bywyd, o'n mebyd hyd yr awr hon. Fel yr ydym yr awron wedi heneiddio mewn pechod, ac wedi ein goresgyn â llygredigaeth. Er bôd yr amser a roddaist ini i fyw yma yn fyrr iawn, megis munud awr i dragwyddoldeb; etto ysywaeth, leied o'r amser byrr hwn a ddarfu ini ei fyw itti ein Duw, neu er lleshâd i'n heneidiau ein hunain! gan gamdreulio y rhan fwyaf o'n dyddiau mewn gwagedd a thrythyllwch.

Hir

Hir y buom heb dy anabod di; pa faint o
oddion gwybodaeth a gawsom ni, ac etto
eied o wybodaeth sydd gynnym ni? och
eied a wnaethom ni am ein heneidiau, a'r
Bŷd a ddaw? Ni ddarfu ini ystyried beth
sydd debyg i ddigwydd ini a'r ol hyn. Oh
eied o boen a gofal a gymerasom i geisio sic-
rwydd am Dragwyddoldeb! Ni a gymera-
som y ffordd i'n difetha ein hunain yn dragy-
wydd. Ni a dorrasom bob un o'th gyfrei-
thiau Sanctaidd cyfiawn di ddeng-mil
a dengmil o weithiau.

Ie ni a bechasom yn erbyn dy Efengyl di,
gan fod yn ddi-ystyr o'th gynnigion grasol o
drugaredd. Er itti ddanfon cennad a'r ol
cennad i'n troi ni, ac i ddymuno arnom roi
ymaith ein pechodau, a derbyn Jesu Ghrist,
etto, ysywaeth! pa fodd y darfu ini ddi-
ystyru dy Gennadon di, a throi 'r glûst fyddar
i'th wahoddion grasol! Er ein bôd yn ewyl-
lysgar i gymeryd Christ yn Iachawdr ini, i'n
cadw rhag uffern a damnedigaeth; Etto,
ysywaeth, mor annewyllysgar ydym iw
gymeryd ef yn Arglwydd ac yn Frenin, i
wneuthur ufudd-dod ac ymostyngiad iddo?
Ni allwn, Arglwydd, ond cydnabod ein han-
niolchgarwch mawr tan yr amryw ddaioni
a thrugareddau, y rhai mewn mesur helaeth
a dywelltaisti arnom; fel hefyd ein hanfu-
ddiolder tan y Ceryddon tadol, a roisti ar-
nom mewn cariad er daioni ini; a'n hanfod-
lonrwydd tan ein ystâd a'n cyflwr presennol.
Ac och mor ddiofal a fuom yn cyflawni dlee-
swyddau ein lleoedd, a'n galwedigaethau,
a'n perthynasau! Oh y lliaws o feddyliau
bydol cybyddus, o feddyliau uchel beilchion,
o feddyliau drwg halogedig, o feddyliau
trythyll ac aflan; ie o feddyliau cabiaidd
di-dduw, sydd yn lletteua ynghalonnau y

rhan fwyaf o honom, acyno yn cael eu rhwysg ddydd a nôs! Ac o Arglwydd, ni allwn ond cydnabod marweidd-dra ein calonnau, gwibiad ein meddyliau yn cyflawni ein dledswyddau sanctaidd. Yr ydym yn wisgi ac yn fywiog ynghylch ein matterion bydol, ond och mor ddwl a thrymbluog ydym yn ein gwasanaeth crefyddol! yn gweddio fel pettem heb weddio, yn gwrando fel pettem heb wrando. Arglwydd, gwnâ ini fod yn wir deimladwy ac ystyriol o'n pechodau a'n trueni, fel y gwir ymostyngom tanynt, ac y trothom attati trwy wir ddiffuant edifeirwch.

Trô ni ô Dduw, ac ni a droir; tyn ni, ac ni a redwn a'r dy ôl. Ac ô Arglwydd, tra fo'm ni yn trôi attati, bydd, ni attolygwn itti, yn ein cyfarfod ni a'r y ffordd, ac fel Tâd tyner cofleidia ni â breichiau dy drugaredd. Mae ein pechodau yr ydym yn cydnabod, yn aml ac yn dramawr, etto ni a wyddom, ac yr ydym yn credu fôd dy drugareddau di yn llawer amlach, a haeddedigaethau Christ Jesu yn llawer mwy: Ac am hynny yr ydym yn llawn-fwriadu bwrw ein heneidiau, fel a'r dy drugareddau di ein Duw, felly a'r haeddedigaethau Jesu Ghrist, i freichiau pa un yr ydym yma yn ein taflu ein hunain.

Oh rhynged bodd it ein gwneuthur ni yn gyfrannogion o haeddiant marwolaeth Christ i'n gwaredu oddiwrth euogrwydd pechod, ac o rinwedd marwolaeth Christ i'n gwaredu oddiwrth rym a llywodraeth pechod, fel na theyrnaso ynom megis o'r blaen. Arglwydd gweithia ynom i ffieiddio ac i wir gasâu pob math a'r bechod, yn enwedig y rhai y buom yn gaethaf iddynt, ac fwyaf yn ymhyfrydu ynddynt. I'r diben hwn argoedda ni

ni o'r ffoledd, ie yr ynfydrwydd, ydyw am fyrr fwyniant pechadurus ymo, yn fuddo ein hunain a'r ôl hyn mewn lloscfeydd tragwyddol. Oh dychwel bob enaid annychweledig yn ein mysg. Dŵg ni at Christ, gwnâ ini ymrôi i geisio 'r byd arall; bydded ini lwyr-fwriadu o hyn allan am fyw buchedd sanctaidd a chyfiawn; hyfforddda ni yn dy ffyrdd, a dŷsg ini dy ddeddfau. Torr rym ein pechodau, darostwng ein calonnau gwrthryfelgar, a gwnâ ni yn ewyllysgar i fod yn eiddo 'r Arglwydd. Newid ein natur ddrŵg ni, a dyro ini yspryd arall, cymorth ni i'th ddewis di yn ddifrifol am ein rhan a'n hetifeddiaeth; i'th garu, i'th ofni, ac i ymddiried ynoti; ac i rodio yn ostyngedig gydâ thi holl ddyddiau ein bywyd. Helpia ni i osod ein serch ar bethau uchod, ac nid yn hwy ar y ddaiar hon; bydded ini farw beunydd i bechod ac i'r bŷd; bydded ini ymarfer i gadw cydwybod dda tuac at Dduw a dynion, bydded ini weithio allan ein hiechydwriaeth trwy ofn a dychryn, a rhoi pob diwydrwydd i wneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicer; ac na fydded ein llafur ni yn hynny yn ofer.

Cadw ni ô Dduw, oddiwrth ein hanwireddau; cadw ni rhag ffordd y celwydd, rhag pob marchnad draws ac anghyfiawn; rhag pob llîd a gogan-air; bydded ini fôd yn gywir; ym gymhedrol, yn heddychol, ac yn drugarog, fel plant ein Tâd nefol. Helpia ni i fôd yn ddifrifol, yn flasus, yn dyner ac yn wiliadwrus, a dŵg ni ym mlaen yn wastad mewn ymarweddiad sanctaidd hyd ddiwedd ein hoes.

*Yn y Borau.*

Arglwydd cymer ni i'th gadwraeth a'th amddiffyn y dydd hwn: cadw ni rhag pôb perigl, yn enwedig rhag pechu yn dy erbyn. Ir diben hwn, gwnâ ni yn wiliadwrus yn erbyn achosion pechod, a profedigaethau iddo. Cadw ni, attolwg, rhag seguryd; a bendithia ein holl waith cyfreithlon. Felly ysprydola ein calonnau a'n hanwydau, fel y bo gennym galonnau nefol yn ein gorchwylion daiarol; ac felly dy was'naethu di ein Duw, tra fo'm ni yn gwas'naethu ein hangenrheidiau ein hunain.

*Yn yr Hŵyr.*

Arglwydd cymer ni i'th gadwraeth a'th amddiffyn y nôs hon: bydded ini lettéu ym mreichiau Jesu Christ, fel y gorphwysom yn ei fynwes ef. Dyro ini y fath orphwystra a chwsg melys cyssurus, fel y llonner ein cyrph ni, ac y bo'm ni yn aplach i'th was'naethu di y dydd nesaf yn ein lleoedd a'n galwedigaethau neillduol. Helpia ni i gadw bob amser a'r ein calonnau ddwys deimlad, fel o siccrwydd ein marwolaeth, felly o ansiccrwydd yr amser y delo: fel y bo ini fyw megis y rhai hynny a gredo y bydd rhaid iddynt ar fyr farw.

Gyda

Gydâ ni, bendithia ni attolygwn itti, dy holl Eglwys; Galw dy hên bobl yr Iddewon, a dŵg i mewn lawnder y Cenhedloedd. Ac yn enwedigol ni a weddiwn arnati am ein Cenedl ein hunain, gwlâd ein genedigaeth, maddeu ei phechodau gwaeddfawr; glawia arni dy fendithion amserol ac ysprydol. Yn enwedig ni attolygwn itti fendithio ein pen-llywydd Brenhinol, fel y gallom tano ef fyw mewn heddwch a llonyddwch gydâ phob duwioldeb ac honestrwydd. Bendithia hefyd ein holl Swyddogion, a Gweinidogion dy Air Sanctaidd. Tydi ô Arglwydd y cynhaiaf, danfon allan amlder o Lafar-wŷr i'th gynhaiaf. Ac ô Dâd trugarog, edrych i lawr a golwg dy dosturi a'th drugaredd a'r dy holl rai cystuddiedig; bydded dy drugareddau yn gyfattebol iw holl gyfyngderau a'u hangenrheidiau. Bendithia 'r holl Deuluoedd Christianogol, hwn yn enwedig, cyfoethoga bôb enaid a phob grâs anghenrheidiol ac iachusol.

Y bendigedig Arglwydd Dduw, yn ôl ein rhwymedig ddlêd, yr ydym yn offrymmu ein Haberth o Foliant a Diolch i'th fendigedig Fawredd yn Enw a chyfryngiad dy Fâb anwyl Jesu Ghrist; gan dy fendithio a'th foliannu am ein hiechyd a'n cyfoeth, ein hymborth a'n dillad, am ein cynnhaliad o ddechreuad ein hoes hyd yr awr hon. Yr ydym, uwchlaw y cwbl, yn dy fendithio am y rhodd honno o roddion, yr Arglwydd Jesu. Ac am yr Efengyl, yn yr hon y darfu itti râd-gynnig Christ ini a'i holl fendithion. Ni a'th fendithiwn am ba faint bynnag o râs a weithiaisti yn yr vn o honom trwy yr Efengyl; ac am y gobaith da a roddaist ini trwy râs. Ni a fendithiwn dy Enw am ein cynnal hyd yn hyn y dydd heddyw. Chwanega,

nega, attolwg, y drugaredd hon, dyro ini râs i fyw megis yn dy olwg, yr hwn a weli ein holl ffyrdd, ac a wyddost bob peth dirgel yr ým yn ei wneuthur. Ac yr awron Arglwydd, derbyn ein personau, er eu bôd yn bechaduriaus; a'n gwasanaeth, er ei fod yn llawn o wendid, yn dy Fab anwyl, yn yr hwn ith fodlonwyd. Yn enw pa un, a'i eiriau, yr ydym ym mhellach yn galw arnat, gan ddywedyd, Ein Tâd yr hwn wyt yn y Nefoedd, &c.

*Gweddi i un a'r ei ben ei hun.*

O Dragwyddol a byth fywiol Arglwydd Dduw, ffynnon pob bendith, Tâd trugaredd, a Duw pôb diddanwch; Myfi dy greadur truan, llwyr-annheilwng i ymddangos gar dy fron, i dywallt fy ngweddi a'm deisyfiadau attat; ŵyf etto yn enw a chyfryngiad dy anwyl Fâb Jesu Ghrist yn fy mwrw fy hun i lawr wrth droedfainge dy râs yn disgwyl fy nerbyn am cynnorthwyo ynddo ef a thrwyddo ef. Er ei fŵyn ef edrych yn rasol arnaf, maddeu fy mhechodau fydd fawr ac aml. Arglwydd, ni allaf ond cydnabod, fod ynof, heblaw euogrwydd pechod *Adda*, ffynnon fudr o lygredigaeth, a ddaeth gydâ mi i'r byd: o ba vn y dylifodd allan yn halaeth lawer o ffrydau gwenwynllyd o gamweddau gwneuthurol, a hynny mewn meddyliau drŵg, geiriau drŵg, a gweithredoedd drŵg; y rhai a wneuthum holl ddyddiau fy mywyd, o'm gwael febyd hyd yr awr hon Mi a ymddieithrais oddiwrth fuchedd Dduw trwy 'r anwybodaeth fydd ynof; Mi a rodiais a'r ôl helynt y bŷd hwn, yn gwneuthur ewyllysiau 'r cnawd a'r meddwl, gan fynied pethau daiarol.

daiarol. Mi a dorrais dy Gyfraith, a esgeulusais dy Efengyl, a wrthodais gynnigion Christ, ac ŵyf yn mawr ammeu na weithiwyd dim gwaith da ynof hyd y dydd hwn: ond fy mŏd yn parhàu ym mustl chwerwder a rhwymedigaeth anwiredd.

Arglwydd, ni allaf ond cydnabod, imi gamarfer yn frwnt gyfoeth dy ddaioni, a'th ddioddesgarwch, a'th hir-ymaros a ddylasent fy nhywys i edifeirwch: fel hefyd dy geryddon tadol a roddaist mewn cariad arnaf, ac er llesâd imi: Oh leied o dda ac o leshâd a gefais oddiwrthynt! Pa fodd yr wyf yn treulio fy amser a'm nerth yn ceisio cyfoeth daiarol, am bodloni fy hunan ag hyfrydwch cnawdol, ac yn y cyfamser yn ddiofal am fy enaid gwerthfawr ac anfarwol? Arglwydd, fe ddarfu imi yn fynych am fudd bydol a llawenydd esgeuluso a rhoi heibio y gwasanaeth sanctaidd crefyddol a ddylaswn ei gyflawni; ac a fûm yn ddwl ac yn farwedd iawn, yn ddiwres ac yn ddigalon yn cyflawni y dledswyddau da hynny a gymerais mewn llaw. Mi a fûm yn ddiffrwyth tan lawnder helaeth o Foddion grâs, yn anniolchgar am y trugareddau mawr a roddaist imi, heb gyflawni 'r amryw addewidion a'r addunedau a wnaethum itti, ô fy 'Naw. Yn wîr Arglwydd, mae fy mhechodau yn fawr ac yn aml; ond hyn yw fy hyder, ddyfod Jesu Ghrist i'r Bŷd i gadw pechaduriaid, a pha ham nad finnau? a pha'm nad finnau? Yr wyfi yn cydnabod fy môd yn bechadur mawr; etto dy air sydd drachefn yn tystiolaethu, ddyfod Jesu Ghrist i gadw y pennaf o'r pechaduriaid. Am hynny ni anobeithiau o drugaredd; ond llywr-fwriadu yr ŵyf fy mwrw fy hun, a baich fy mhechodau i freichiau, ac

a'r ysgwyddau Jesu Ghrist. Rhynged bodd it dderbyn yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd Christ trosofi, a derbyn finnau ynddo ef.

Trô fi, ô Arglwydd, attat dy hun, a bydded it gymmodi â mi trwyddo ef. Lladd y gelyniaeth, a darostwng wrthryfel fy nghalon yn dy erbyn. Golch fy enaid aflan a'i waed gwerthfawroccaf ef, cuddia fy noethni a gwisg wen-llaes ei gyfiawnder ef, llanw fy ngwagder i a'r llownder sydd yn Jesu Ghrist. Cynnysgaeddda fy enaid â phob rhâd angenrheidiol, iachusol a sancteiddiol. Bydded ffydd etholedigion Duw, bydded cariad ac ofn dy enw wedi ei dywallt a'i danu yn fy nghalon. Oh na byddai pôb grâs yn cynnyddu fwyfwy ynofi, a'm chwantau yn gwywo ymaith fwyfwy ynofi. Bydded i'm cybydd-dod farw; bydded i'm balchder, a'm cenfigen, a'm ffromder, am rhan gnawdol farw; destrywier holl gorph y pechod ynofi, na bo imi rhag llaw wasnaethu pechod. O dyro imi râs yn fy nydd hwn i wybod y pethau a berthyn i'm heddwch, ac i wneuthur iawn arfer o amser fy ymweliad. Fel y cynnigir Christ yr awron yn fynych yngweinidogaeth yr Efengyl yn Iachawdr i bechaduriaid truain; felly Arglwydd, dyro imi râs i ymwasgu trwy ffydd a'r cynnigion nefol, fel y bo Christ yn eiddofi, a minneu yn eiddo yntef. Fel y rhyngodd bodd it roi i mi Foddion grâs; felly attolygaf it, fy ngymorth i ymddŵyn mewn rhyw fesur yn gyfattebol iddynt; fel na byddwyf yn warth, ond yn hytrach yn harddwch i'r Grefydd, ac i'm proffess o honi. Ir diben hwn, dŷsg imi wadu pob annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y bŷd presennol hwn.

Argl-

Arglwydd bendigedig, gan mai heb dy fendith di ofer imi osod allan fy mhoen a'm llafur fy hunan, attolygaf it fy nghymorth i lafurio yngwaith yr Arglwydd, ac i goroni fy llafur am hegni â bendith o'r nefoedd. Gwnâ fi yn fwy ysprydol mewn matterion bydol, ac yn llai bydol mewn matterion ysprydol. Rhynged bodd it rôi myfyrdodau da yn fy meddwl, a dymuniadau sanctaidd yn fy nghalon. Na ddeued vn ymadrodd llygredig allan o'm genau, ond y cyfryw ac a baro râs i'r gwrandawyr. Helpia fi i brynu 'r amser, fel na chollwyf vn diwrnod ond hynny, gosod fi yn ebrwydd i weithio allan fy iechydwriaeth mewn ofn a dychryn: Pâr imi ddewis y rhan dda, a cheisio siccrwydd am Dragwyddoldeb: nâd imi fyth anturio fy enaid a'r obaith ffals twyllodrus, ond pâr imi wneuthur y cwbl yn siccr. Arglwydd daionus, na'd imi gael fy nhwyllo, fel i'm caffer yn rhagrithiwr yn y diwedd; ond bydded imi fy nghael yn y ffydd, fel y caffwyf orfoledd ger dy fron yn y dydd mawr.

Ac nid wyf yn gweddío trosof fy hunan yn unig, ond hefyd tros dy holl Eglwys, pa le bynnag yn wascaredig, neu pa fodd bynnag yn gystuddiedig a'r hŷd wyneb yr holl ddaiar. Yn enwedig mi attolygaf it fendithio y Deyrnas a'r Genedl hon â phôb màth a'r fendith, corphorol ac ysprydol. Ac ynddi ein penllywydd a'n Brenin; gwnâ ef yn offeryn yn dy law i ddwyn llawer o ogoniant i'th enw, llawer o ddaioni i'th Eglwys a'th bobl: Bendithia ef yn ei Berthynasau, Cynghoráu, a'i luoedd. Bendithia y Swyddogion a'r Gweinidogion, a holl bobl y tîr, Aelodau cystuddiedig Jesu Ghrist; bydded dy drugareddau yn gymwys ac yn gyfat-

gyfattebol iw hangenrheidiau. Caniadhâ i bob vn o honom rás i fyw yn dy ofn di, i farw yn dy ffafr, ac i deyrnasu gydâ thi yn dragywydd yn y Nefoedd.

Ac yn awr, ó Arglwydd, yn enw Jesu Grist yr ŵyfi yn bendithio ac yn clodfori dy ogoneddus Fawredd, am yr holl amryw drugareddau a dywelltaisti mewn modd helaeth a'r fy enaid a'm corph; am fy nghadw i fel oddiwrth amryw beryglon a digwyddiadau niweidiol, felly oddiwrth lawer o bechodau, y rhai trwy lygredigaeth y cnawd, a thrwy demtasiwn Satan y buasiwn yn rhuthro iddynt yn ddisymmwth. Molianus fo dy enw a'm dy ragluniaeth daionus trosofi fy holl ddyddiau; ti a fuost yn Dduw imi ô grôth fy mam, ac am diwellaist â phob peth da angenrheidiol: Ond uwchlaw 'r cwbl, moliannus fyddo dy enw, am Sylfaen ein holl drugareddau ni, dy anwyl Fâb; am y pethau mawr, y rhai a wnaeth ac a ddioddefodd efe trosofi, ac am yr amryw bethau daionus, yr ŵyf ynddo a thrwyddo ef mewn gobaith am danynt, neu yn gyfrannog o honynt. Arglwydd, maddeu yr amryw wendid ac ammherffeithrwydd yn y gwasanaeth sanctaidd hwn, yn a thrwy dy anwyl Fâb, Jesu Ghrist; yn enw a geiriau pa vn, yr ŵŷf ym mhellach yn galw arnat, gan ddywedyd, Ein Tâd yr hwn ŵyt yn y Nefoedd, sancteiddier dy enw: Deued dy Deyrnas; Bydded dy ewyllys a'r y Ddaiar fel y mae yn y Nefoedd. Dyro ini heddyw ein bara beunyddiol; A maddeu ini ein dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwŷr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg. Canys eiddotti yw 'r Deyrnas, a'r Gallu, a'r Gogoniant, yn oes oesoedd, *Amen.*

*Gweddi ferr iw dyscu i blant, pan gynnyddont i allu ymarfer â'r ddyledswydd hon.*

O Arglwydd Dduw, yr wyfi yn blentyn gwael, wedi fy ngeni mewn pechod, ac wyf wrth natur yn blentyn digofaint, ac mewn enbydrwydd o fyned i uffern im llosci yn dragywydd am fy mhechodau. Tydi a roddaist Grist i fod yn Jachawdwr i mi: Er ei fwyn ef, ô Arglwydd, maddeu imi fy mhechodau, a gwna fi yn blentyn i ti drwy 'r adenedigaeth, a hoffa di fi megis dy blentyn, a chynorthwya fi i'th garu di megis Tâd, ac i'm rhoddi fy hun iti. O Arglwydd cadw fi rhag pob pechod, rhag dywedyd celwydd, a lledratta, rhag gwlltineb, seguryd, a gwagedd. Gwna fi yn ufydd i'm rhieni a'm llywiawdwyr, i dderbyn eu haddysc hwy, ac i ddilyn eu cynghorion da hwy, ac i ymddarostwng iw ceryddon hwy. Gweithia râs yn fy nghalon i, a phar i mi gynnyddu ynddo, megis y cynnyddwyf mewn oedran. O Arglwydd, gwna i mi fyw yn dy ofn di fy holl ddyddiau, a dwg fi ir nefoedd pan fyddwyf marw. Gwared fi ddydd a nôs oddiwrth bechod a pherigl; Bydd di i mi yn Dâd, a chymer ofal am danafi, a pherchenoga fi i fod yn eiddoti o hyn allan ac yn dragywydd. *Amen.*

Terfyn.

gyfattebol iw hangenrheidiau. Caniadhâ i bob vn o honom rás i fyw yn dy ofn di, i farw yn dy ffafr, ac i deyrnasu gydà thi yn dragywydd yn y Nefoedd.

Ac yn awr, ó Arglwydd, yn enw Jesu Grist yr ŵyfi yn bendithio ac yn clodfori dy ogoneddus Fawredd, am yr holl amryw drugareddau a dywelltaisti mewn modd helaeth a'r fy enaid a'm corph; am fy nghadw i fel oddiwrth amryw beryglon a digwyddiadau niweidiol, felly oddiwrth lawer o bechodau, y rhai trwy dygredigaeth y cnawd, a thrwy demtasiwn Satan y buaswn yn rhuthro iddynt yn ddisymmwth. Molianus fo dy enw a'm dy ragluniaeth daionus trosofi fy holl ddyddiau; ti a fuost yn Dduw imi ô grôth fy mam, ac am diwellaist â phob peth da angenrheidiol: Ond uwchlaw 'r cwbl, moliannus fyddo dy enw, am Sylfaen ein holl drugareddau ni, dy anwyl Fàb; am y pethau mawr, y rhai a wnaeth ac a ddioddefodd efe trosofi, ac am yr amryw bethau daionus, yr ŵyf ynddo a thrwyddo ef mewn gobaith am danynt, neu yn gyfrannog o honynt. Arglwydd, maddeu yr amryw wendid ac ammherffeithrwydd yn y gwasanaeth sanctaidd hwn, yn a thrwy dy anwyl Fâb, Jesu Ghrist; yn enw a geiriau pa vn, yr ŵyf ym mhellach yn galw arnat, gan ddywedyd, Ein Tàd yr hwn ŵyt yn y Nefoedd, sancteiddier dy enw: Deued dy Deyrnas; Bydded dy ewyllys a'r y Ddaiar fel y mae yn y Nefoedd. Dyro ini heddyw ein bara beunyddiol; A maddeu ini ein dyledion, fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwŷr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg. Canys eiddotti yw 'r Deyrnas, a'r Gallu, a'r Gogoniant, yn oes oesoedd, *Amen*.

*Gweddi*

*Gweddi ferr iw dyſcu i blant, pan gynnyddont i allu ymarfer â'r ddyledſwydd honno.*

O Arglwydd Dduw, yr wyfi yn blentyn gwael, wedi fy ngeni mewn pechod, ac wyf wrth natur yn blentyn digofaint, ac mewn enbydrwyd o fyned i uffern im lloſci yn dragywydd am fy mhechodau. Tydi a roddaiſt Griſt i fod yn Jachawdwr i mi: Er ei fwyn ef, ô Arglwydd, maddeu imi fy mhechodau, a gwna fi yn blentyn i ti drwy 'r adenedigaeth, a hoffa di fi megis dy blentyn, a chynorthwya fi i'th garu di megis Tâd, ac i'm rhoddi fy hun iti. O Arglwydd cadw fi rhag pob pechod, rhag dywedyd celwydd, a lledratta, rhag gwlltineb, ſeguryd, a gwagedd. Gwna fi yn ufydd i'm rhieni a'm llywiawdwyr, i dderbyn eu haddyſc hwy, ac i ddilyn eu cynghorion da hwy, ac i ymddaroſtwng iw ceryddon hwy. Gweithia râs yn fy nghalon i, a phar i mi gynnyddu ynddo, megis y cynnyddwyf mewn oedran. O Arglwydd, gwna i mi fyw yn dy ofn di fy holl ddyddiau, a dwg fi ir nefoedd pan fyddwyf marw. Gwared fi ddydd a nôs oddiwrth bechod a pherigl; Bydd di i mi yn Dâd, a chymer ofal am danafi, a pherchenoga fi i fod yn eiddoti o hyn allan ac yn dragywydd. *Amen.*

Terſyn.



*Yr un cyfarwyddyd ir anllythrennog i ddyscu darllain Cymraeg, ac a breintwyd yn Hanes y ffydd.*

*Y llythyrennau* { *sengl.* a b c d e f g h i l m n o p r s t u y. / *dyblyg.* ch dd ff ll ng ph th w.

A B C Ch D Dd E F Ff G H I L Ll M N Ng O P Ph S T Th V W Y.

*a b c ch d dd e f ff g h i l ll m n ng o p ph r s t th u w y.*

*A B C Ch D Dd E F Ff G H I L Ll M N Ng O P Ph R S T Th V W Y.*

a b c ch d dd e f ff g h i l ll m n ng o p ph r s t th u w y.

A B C Ch D Dd E F Ff G H I L Ll M N Ng O P Ph R S Th V W Y.

Cynefin yn y Saesonaec yw'r ddwy lythyren yma, sef X Z. c. a fwn arnyn e

. mwyn darllen y bibl. Ond afraid fyddai eu benthyccio, pe'd arferid CS yn lle 'r gyntaf, ac S fain-Sain yn lle'r ail.

Y bogeiliaid, a e i o u w y.

Cydseiniaid y gelwir y lleill eu gyd. Un bogail ac un gydsain neu angwaneg, oi hadrodd ar unwaith, a wnant Sylaft, fal hyn, ab eb ib ob ub wb yb. Ac ec ic oc uc wc yc. Ach ech ich. Ad ed id od ud wd yd. Add edd idd odd udd wdd ydd. Af ef off off wff yff. Ag eg ig og ug wg yg. Ah eh: il ol wll yll. Am em im: on un wn yn. Ang eng ing. Op up wp yp. Ap eph. Ir or: us ws ys. At et it: oth uth wth yth.

Ba be bi bo bu bw by. Ca ce ci: do du dw dy. Dda dde: fi fo fu ffw ffy. Ga ge: hi ho, lu lw. My, na ne pi po phu, rw ry. Sa se: ti to thu thw thy.

Y geiriau byrraf o un sylaft y maent, megis byd, tâd. y geiriau hwyaf a wneir wrth adrodd amryw sylaftau ar un anadl, megis dar-llen, edifar-ha, crea.

Cyssylltiad o amryw eiriau mewn trywyr yw adroddiad. Yr hyn fel y gallo iti ei ddarllen yn ddeallus, rhaid it lywodraethu dy leferydd wrth y nodolau hyn. Sef yw hynny, os bydd nôd hwn ( ? ) yn calyn ymadrodd,

 dar-



*Yr un cyfarwyddyd ir anllythrennog i ddyscu darllain Cymraeg, ac a breintwyd yn Hanes y ffydd.*

*Y llythyrennau* { *sengl.* a b c d e f g h i l m n o p r s t u y. / *dyblyg.* ch dd ff ll ng ph th w.

A B C Ch D Dd E F Ff G H I L Ll M N Ng O P Ph S T Th V W Y.

*a b c ch d dd e f ff g h i l ll m n ng o p ph r s t th u w y.*

*A B C Ch D Dd E F Ff G H I L Ll M N Ng O P Ph R S T Th V W Y.*

a b c ch d dd e f ff g h i l ll m n ng o p ph r s t th u w y.

A B C Ch D Dd E F Ff G H I L Ll M N Ng O P Ph R S T Th V W Y.

Cynefin yn y Saesonaec yw'r ddwy llythyren yma, sef X Z. ca fwn arnyn-

e

mwyn darllen y bibl. Ond afraid fyddai eu benthyccio, ped arferid CS yn lle 'r gyntaf, ac S fain-Sain yn lle'r ail.

Y bogeiliaid, a e i o u w y.

Cydseiniaid y gelwir y lleill eu gyd.

Un bogail ac un gydsain neu angwaneg, ei hadrodd ar unwaith, a wnant Sylaft, fal hyn, ab eb ib ob ub wb yb. Ac ec ic oc uc wc yc. Ach ech ich. Ad ed id od ud wd yd. Add edd idd odd udd wdd ydd. Af ef off wff yff. Ag eg ig og ug wg yg. Ah eh: il ol wll yll. Am em im: on un wn yn. Ang eng ing. Op up wp yp. Ap eph. Ir or: us ws ys. At et it: oth uth wth yth.

Ba be bi bo bu bw by. Ca ce ci: do du dw dy. Dda dde: fi fo fu ffw ffy. Ga ge: hi ho, lu lw. My, na ne pi po phu, rw ry. Sa se: ti to thu thw thy.

Y geiriau byrraf o un fylaft y maent, megis byd, tad. y geiriau hwyaf a wneir wrth adrodd amryw fylaftau ar un anadl, megis dar-llen, edifar-ha, crea.

Cyssylltiad o amryw eiriau mewn trywyr yw adroddiad. Yr hyn fel y byddo iti ei ddarllen yn ddeallus, rhaid iti lywodraethu dy leferydd wrth y nodolau hyn. Sef yw hynny, os bydd nod hwn ( ? ) yn calyn ymadrodd,

 dar-

darllen ef ar Sain ymofyn. Os hwn ( , ) neu hwn ( : ) gwybydd na orphenwyd mor ymadrodd, eithr bod ychwaneg perthynawl iddo yn ôl. Ond pan welech hwn ( . ) attal dy leferydd, am ddyfod hynny o ddywediad ir pen. A phan welech eiriau wedi cau arnynt ymlaen ag yn ol (fal hyn) ymsang mewn rheswm ydynt : a chysylltu yn dy ddeall y pethau o'r blaen, ac o'r ol, megis na buasai ddim arall yn taro rhyngthynt. A llefara y sylaft yn hirllaes a fyddo a'r nôd hwn ( ^ ) uwch ei ben. A phan fo bogeiliaid yn diweddu'r naill air, ac yn dechreu'r llall, torrir ymmaith un o honynt, i ochelyd drygsain, a bydd y nôd hwn ( ' ) uwchben ei lle.

Nodau rhifyddiaeth. 1, 2, 3, 4, 5, 6, 7, 8, 9, 10, 11, 12, 13, 14, 15, 16, 17, 18, 19, 20, 21, 22, 23, 24, 25, 26, 27, 28, 29, 30, 31, 32, 33, 34, 35, 36, 37, 38, 39, 40, 41, 42, 43, 44, 45, 46, 47, 48, 49, 50, 51, 52, 53, 54, 55, 56, 57, 58, 59, 60, 61, 62, 63, 64, 65, 66, 67, 68, 69, 70, 71, 72, 73, 74, 75, 76, 77, 78, 79, 80, 81, 82, 83, 84, 85, 86, 87, 88, 89, 90, 91, 92, 93, 94, 95, 96, 97, 98, 99, 100, 101, 102, 103, 110, 111, 112, 119, 120, 140, 150, 160. A serir yn y bibl y nodau hyn i ddar-

g

gos rhifedi'r pennodau. I. II. III. IV. V. VI. VII. VIII. IX. X. XI. XII. XIII. XIV. XV. XVI. XVII. XVIII. XIX. XX. XXI. XXII. XXIII. XXX. XXXV. XXXIX. XL. XLI. L. Dêg a dugain. LX triugain. XC pedwar ugain a dêg. C. cant. CX cant a dêg.

Pan gyffyrddech a ffigurau sy'n dangos oed y byd neu oedran yr Arglwydd, neu ryw rifon eraill, gwybydd os bydd pedwar o honynt ynghyd, fod y nesaf at dy law ddehau di yn arwyddoccau unau, a'r ail ddegau, ar trydydd gantoedd, ar pedwerydd filoedd, megis yn rhifedi y flwyddyn hon 1679. y nesaf at dy law ddehau di yw naw, a'r nesaf atto yntef yw saith o ddegau, sef triugain a dêg: a'r nesaf at hwnw yw chwechant, a'r olaf yw un mil. Wedi bwrw yn ôl tyred eilwaith ym mlaen, a chei un mil, a chwechant a phedwar ar bumtheg a thriugain.



Agoriad ar ryw Eiriau, nad ydyw rhai pobl yn eu deall, yn rhyw fannau o *Ddehu-dir cymru*, wedi eu hegluro trwy eiriau mwy cyffredin a sathredig.

AChlysur, *Achos, amser cyfaddas i wneuthur peth.*
Achlysurawl, *fel y bo achos ac amser cyfaddas.*
Adeg, *Arfod, amser cyfaddas i wneuthur peth.*
Addurno, *Harddu.*
Adferu, *Atcyweirio, Adnewyddu.*
Ammodau, *Condisiwnau, pethau iw cyflawni.*
Anfeidrol, *Annhersynnedig.*
Angerdd, *Gwres, ffyrnigrwydd.*
Angerddol, *Poeth.*
Anghymmhedrol, *Anghymmesur.*
Anghyweithas, *Afrywiog.*
Anghyweithasrwydd, *creulonder.*
Anhyf, *Heb condra.*
Anian, *Nature*

Anianol

Anianol, *Naturiol.*

Anllad, *Cnawdol, godinebus, wanton.*

Anlladrwydd, *Drygchwant, wantanrwydd.*

Annirnadwy, *nad ellir ei ddeall yn gwbl.*

Anniwair, *Anonest, aflan.*

Anturio, *Rhyssygu, mentro, dodi mewn perygl.*

Anwydau, *Cariad, chwant, casineb, hyfrydwch, tristwch, gobaith, ofn, &c. yw* Anwydau*'r Enaid.*

Arfaeth, *Pwrpas.*

Argraphu, *Scrifennu.*

Arlwy, *Paratoad.*

Arswyd, *Ofn.*

Arswydo, *Ofni.*

Arteithiau, *Poenau, cospedigaethau.*

Athrylith, *Naturiaeth.*

Bendant, *Yn hollawl, yn bennaf dim.*

Bendifaddeu, *Yn bennaf dim.*

Bendramwnwgl, *Dibyn dobyn.*

Ben-llywydd, *Llywodraethwr.*

Bloddest, *Dyfyrrwch.*

Bonllef, *Cri mawr.*

Brawdle, *Gorsedd-fainge barn.*

Breintiau, *Rhagoriaethau, cymmeriad.*

Budreddi, *Brynti.*

Byg, *Pitch.*

Chued, *anwyled.*

Chwiwo, *lledratta pethau bychain.*

Concwerwr, *Gorchfygwr.*

Cu, *Anwyl.*

Cuaf, *Anwylaf.*
Cychwyniad, *Dechreuad, cyfodiad.*
Cyfleusder, *Cymmwysder.*
Cymmhedrol, *Cymmesurol.*
Cynnwrf, *Cyffro.*
Cynnyrchiad, *Cynnydd.*
Cyssonol, *Cyweddu.*
Cyweithas, *Mwynaidd, tirion.*
Cyweithasrwydd, *Mwyneidd-dra tiriondeb.*
Cywreinrwydd, *Manoldeb, gwybodaeth, scil, a medr.*
Cywraint, *Perffaith gwbl.*
Darbod, *Paratoi.*
Deilliaw, *Lliso allan, myned allan.*
Denu, *Temtio, hudo, tynnu trwy deg.*
Deniadau, *Profedigaethau, hudoliaethau.*
Deol, *gyrru allan o'r wlâd.*
Diamgyffred, *Yr hyn ni ellir ei gyrraedd a'i ddeall.*
Diattreg, *Diocd, didaring.*
Diblo, *Diwyno.*
Didrange, *tragwyddol.*
Difinwŷr, *Gweinidogion dyscedig.*
Diffuant, *Purlan, diragrith.*
Difrif a Difrifol, *Prûdd, pryssur.*
Difrodi, *Dinistrio.*
Digyfrwng, *Heb neb rhyngom ac arall.*
Dihenyddwŷr, *Cospwŷr, Crogwŷr.*
Dihirwch, *Drygioni.*

Dinam,

